# 6 Y Rheoliad Diogelu Data Cyffredinol a Chodi Arian Elusennol:

# Codi arian ymddiriedolaethau elusennol dan y chwyddwydr

**Cynhyrchwyd gan:** Institute of Fundraising; FR Fundraising Regulator – Rheoleiddiwr Codi Arian

**Adolygwyd gan:** ico. Information Commissioner's Office

## Cyflwyniad

Daw'r Rheoliad Diogelu Data Cyffredinol (y Rheoliad) i rym ar 25 Mai 2018 i ddiweddaru'r fframwaith diogelu data presennol yn y DU. Mae'r ddeddfwriaeth yn cwmpasu pob sector a phob sefydliad - sy'n golygu bod rhaid i bobl mewn gwahanol sefydliadau feddwl am y data personol y gallent fod yn ei brosesu a rhoi'r egwyddorion ar waith yn eu maes gwaith nhw.

## Codi Arian Ymddiriedolaethau

Mae Codi Arian Ymddiriedolaethau yn cyfeirio at y broses o ofyn am gymorth gan ymddiriedolaethau a sefydliadau sydd â'r pŵer i roi grantiau ar gyfer dibenion elusennol. Yn dechnegol, mae ymddiriedolaeth yn berthynas ymddiriedol ("mewn ewyllys da") lle mae unigolyn neu unigolion (ymddiriedolwr/wyr) yn dal ac yn rheoli eiddo er budd un neu ragor o bobl eraill (buddiolwyr). Mae dibenion a rheolau ymddiriedolaeth wedi'u hamlinellu yn ei hofferynnau llywodraethu (gweithred ymddiriedolaeth fel rheol neu Femorandwm ac Erthyglau Cymdeithasu os yw'n gwmni cyfyngedig drwy warant). Mae sefydliad, at ddibenion y Cod hwn, yn gyfystyr ag 'ymddiriedolaeth'.

## Cwestiynau allweddol i godwyr arian ymddiriedolaethau eu gofyn am y Rheoliad

1. **Ydw i'n defnyddio data personol?**

Mae'r Rheoliad yn gymwys i 'ddata personol', sy'n golygu unrhyw wybodaeth sy'n ymwneud ag unigolyn byw y gellir ei adnabod yn uniongyrchol neu'n anuniongyrchol o'r wybodaeth honno - mae hyn yn cynnwys enw, cyfeiriad, manylion cyswllt ond gallai hefyd gynnwys dwy neu ragor o ddarnau o wybodaeth a allai, o'u cyfuno, enwi unigolion penodol gan gynnwys, er enghraifft, cyfuniad o ryw, dyddiad geni, dangosydd daearyddol a disgrifwyr eraill. Mae diffiniad llawnach o "ddata personol" i'w weld yn https://ico.org.uk/

Mae'r ffordd y gall codwyr arian brosesu data personol gan ymddiriedolaethau elusennol yn cynnwys ond heb ei chyfyngu i:

- gwneud ymchwil allanol ar unigolion megis ymddiriedolwyr sefydliad elusennol (er enghraifft, ar-lein neu mewn cyfeirlyfrau cyhoeddedig) i nodi'r ymddiriedolaethau hynny y mae eu hamcanion a'u polisïau yn cyfateb â'r angen y mae angen y grant ar ei gyfer. Gall hyn gynnwys eu sgrinio ar gyfer nodweddion arbennig megis lefel cyfoeth neu ddefnyddio data sydd ar gael yn gyhoeddus amdanynt.
- cysylltu ag ymddiriedolwyr neu weithwyr ymddiriedolaeth i drafod ceisiadau posibl am gyllid.
- storio gwybodaeth cyswllt ymddiriedolwyr neu weithwyr ymddiriedolaeth sy'n berthnasol i'ch cais.

- cyflwyno cais am gyllid.
- dilyn i fyny cyfathrebiadau, gan gynnwys negeseuon o ddiolch a rhoi gwybod i'r ymddiriedolaeth am gynnydd prosiectau.

Er bod ymddiriedolaethau a sefydliadau yn gyrff, bydd hawliau gan y gweithwyr neu'r ymddiriedolwyr yn y cyrff hynny o ran unrhyw ddata corfforaethol sy'n dangos pwy ydynt nhw yn benodol. Mae data personol yn cynnwys cyfeiriadau e-bost corfforaethol a'r manylion cyswllt eraill sy'n enwi unigolion (er enghraifft enw.cyfenw@:sefydliad.org.uk). Felly, fel codwr arian, rydych yn debygol iawn o brosesu data personol wrth ymgysylltu ag ymddiriedolaeth.

**Wrth brosesu data personol, mae'n rhaid i chi ystyried dau fater allweddol:**

- pa ddibenion yr hoffech brosesu'r data personol ar gyfer eu cyfer; a
- sut y byddwch yn dangos bod y data personol wedi cael ei brosesu'n gyfreithlon ac yn deg.

### 2. Beth yw fy sail gyfreithlon ar gyfer cysylltu â gweithwyr ymddiriedolaeth neu ymddiriedolwr sy'n defnyddio data personol?

Os ydych chi'n hyrwyddo'ch elusen i unigolion penodol, mae hyn yn debygol o gael ei gynnwys o fewn y diffiniad o farchnata uniongyrchol, sy'n cynnwys hyrwyddo amcanion elusennau. Fel arall, os ydych yn gwneud gwaith ymchwil ar unigolion o fewn ymddiriedolaeth neu'n casglu data ar yr unigolion hynny at ddiben ceisio arian ar ddyddiad diweddarach, bydd eich gweithgaredd yn cynnwys prosesu at ddibenion marchnata uniongyrchol.

Mae'r amrywiaeth lawn o seiliau cyfreithlon ar gyfer prosesu data personol i'w weld ym ***Mhapur Briffio 1***. Fodd bynnag, fel codwr arian ymddiriedolaethau, mae'n debyg y bydd angen i chi ddibynnu ar naill ai gydsyniad cadarnhaol yr unigolyn neu ar fudd cyfreithlon fel sail i gysylltu â gweithiwr ymddiriedolaethau neu ymddiriedolwr.

#### a) Cydsyniad

Os yw unigolyn wedi rhoi ei fanylion cyswllt i chi gyda chydsyniad penodol i chi gysylltu at ddiben arbennig, cydsyniad fydd eich sail fwyaf priodol mae'n debyg ar gyfer cysylltu.

Fodd bynnag, mewn sawl achos byddwch yn cysylltu â chyswllt ymddiriedolaeth heb gyflwyniad blaenorol, felly gall defnyddio cydsyniad fel sail i gael cydsyniad yn gyfreithiol fod yn anymarferol (peidiwch ag anghofio y bydd hyd yn oed cais am gydsyniad yn gofyn am sail gyfreithiol ar gyfer ei anfon at unigolyn).

Mae'r trothwy ar gyfer cydsyniad o dan y Rheoliad yn uchel; rhaid i gydsyniad gael "ei roi o'ch gwirfodd, bod yn benodol, yn wybodus ac yn arwydd diamwys o ddymuniadau'r unigolyn", felly rhaid i chi wneud yn siŵr eich bod chi'n gallu dangos eich bod chi wedi bodloni pob un o'r meini prawf yma er mwyn gallu cydymffurfio (er enghraifft, hyd yn oed os yw gwefan ymddiriedolaeth yn datgan ei bod yn "croesawu ymholiadau/ceisiadau gan elusennau", nid yw hyn yn debygol o fod yn ddigonol i ddangos bod cydsyniad wedi cael ei geisio gan unigolyn i ddefnyddio ei ddata personol).

#### b) Budd cyfreithlon

Gall codwyr arian ymddiriedolaethau sydd yn ei chael hi'n rhy anodd i gael cydsyniad ddefnyddio budd cyfreithlon fel sail gyfreithiol ar gyfer gweithgareddau marchnata mewn sawl achos, ar yr amod y gallant ddangos fod eu prosesu wedi'i gyfiawnhau yn dilyn Asesiad Budd Cyfreithlon. Os mai budd cyfreithlon yw eich sail ar gyfer prosesu, mae'n rhaid i chi:

- dangos eich bod chi wedi ystyried buddiannau'r unigolyn yn erbyn eich buddiannau chi trwy wneud Asesiad Budd Cyfreithlon (sy'n debygol o fod yn hawdd i'w gyfiawnhau os yw'ch cyfathrebu marchnata uniongyrchol mewn cyd-destun proffesiynol - gweler Cwestiwn 4 isod)
- gadael i'r unigolyn dan sylw wybod eich bod chi'n prosesu ei ddata ac at ba ddiben
- cynnig cyfle i'r unigolyn optio allan o gyfathrebu ymhellach os hoffai wneud hynny

Mae rhagor o wybodaeth am y "prawf 3 cham" ar gyfer budd cyfreithlon i'w weld yng Nghanllaw'r ICO i'r Rheoliad.

Pan fyddwch yn defnyddio budd cyfreithlon, fel arfer byddwch yn gallu defnyddio hysbysiad preifatrwydd i ddangos sut y byddwch yn prosesu data personol unigolyn a sut y gall yr unigolyn optio allan ar yr amod eich bod yn rhoi gwybod i'r unigolyn pan fyddwch yn gohebu ag ef.

### 3. Pa sianeli marchnata alla i eu defnyddio i gyfathrebu ag ymddiriedolaethau a beth yw'r categori 'tanysgrifiwr corfforaethol' o dan fudd cyfreithlon?

Mae anfon e-bost neu ddeunyddiau marchnata SMS i danysgrifwyr unigol yn gofyn am gydsyniad yr unigolyn o dan Reoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig 2003, oherwydd ni fydd optio i mewn meddal yn gymwys i godi arian. Os yw codwyr arian am ddibynnu ar fuddiannau cyfreithlon ar gyfer marchnata fel rheol byddant yn gallu cysylltu ag unigolyn at ddibenion marchnata uniongyrchol trwy'r post neu alwad ffôn byw. (Sylwch pan fydd rhif ffôn wedi'i gofrestru ar y Gwasanaeth Dewis Galwadau Ffôn, rhaid i chi wneud galwadau byw i'r rhif hwnnw oni bai bod cydsyniad gennych i wneud hynny).

Fodd bynnag, pan fyddwch yn cysylltu â sefydliadau, gall fod yn gyfreithlon i godwyr arian ymddiriedolaethau ddefnyddio e-byst i anfon cyfathrebiadau marchnata uniongyrchol trwy'r e-bost o dan y categorïau derbynnydd (tanysgrifiwr corfforaethol) gan ddefnyddio budd cyfreithlon.

Mae'r cyd-destun yn bwysig yma pan fyddwch yn cysylltu â'r unigolyn o ran penderfynu a ydych yn cysylltu â 'thanysgrifiwr corfforaethol' o dan fudd cyfreithlon, ac felly gallwch ddefnyddio sianeli electronig i farchnata.

- O dan Reoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig, byddai'n rhaid i'r sefydliad y mae'r unigolyn yn gweithio iddo gael ei gynnwys o fewn y categori sefydliad 'tanysgrifiwr corfforaethol'. Mae hyn yn cynnwys cwmnïau fel y diffinnir gan Ddeddf Cwmnïau 1985, cwmnïau wedi'u corffori yn unol â siarter frenhinol neu lythyrau patent, unig gorfforaethau, partneriaethau yn yr Alban, ac unrhyw gorff corfforaethol neu endid (gan gynnwys elusennau megis sefydliadau ac ymddiriedolaethau) sy'n berson cyfreithiol ar wahân i'w aelodau.

- Dylai sail y cyfathrebu fod yn berthnasol i waith yr unigolyn o fewn y sefydliad (yn wahanol i gysylltu ag ef mewn rhinwedd personol). Nid yw hyn yn ofyniad penodol y Rheoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig ond dylid ei ystyried yn arfer da o ran sicrhau bod eich cyfathrebu yn briodol yn yr amgylchiadau.

Mae enghreifftiau o ble y gall 'y categori tanysgrifiwr corfforaethol' fod yn gymwys i gyfathrebu gynnwys ceisio rhagor o wybodaeth gan ymddiriedolaeth am gyfle i roi grantiau. Gallai hefyd gynnwys cais codi arian wedi'i gyfeirio at y sefydliad, os gallwch chi ddangos bod y dull yn berthnasol i'w waith (er enghraifft, os yw'ch cais yn unol ag amcanion elusennol yr ymddiriedolaeth neu os yw'r ymddiriedolaeth wedi datgan ei fod yn croesawu ceisiadau gan godwyr arian sy'n cynrychioli achosion arbennig).

Fodd bynnag, er nad oes rhaid i chi gael cydsyniad blaenorol ar gyfer cyfathrebu 'tanysgrifiwr corfforaethol', rhaid i chi wneud asesiad budd cyfreithlon o hyd gan ddefnyddio'r 'prawf 3 cham' (gweler uchod) ac ystyried disgwyliadau rhesymol yr unigolyn.

Er enghraifft, byddai'n anodd i ddangos bod budd cyfreithlon gennych o ran defnyddio data personol i gysylltu ag unigolyn trwy gyfeiriad e-bost corfforaethol heb gydsyniad blaenorol i ofyn iddo gefnogi eich elusen mewn rhinwedd personol, er enghraifft i wneud rhodd bersonol. Ni fyddai'n briodol ychwaith i ddefnyddio'r categori 'tanysgrifiwr corfforaethol' i gysylltu ag unigolyn os nad yw'ch marchnata yn berthnasol i waith y sefydliad (cwestiwn prawf posibl yma fyddai: "Fyddai'n rhesymol i unigolyn ddisgwyl y cyfathrebu hwn yn wyneb y gwaith y mae'r sefydliad yn ei wneud?")

Er nad oes angen cydsyniad blaenorol arnoch ar gyfer cyfathrebu 'tanysgrifiwr corfforaethol', mae'n rhaid i chi gofio y bydd hawl gan gynrychiolwyr unigol o'r cwmni i ofyn i chi roi'r gorau i ddefnyddio ei fanylion cyswllt personol neu anfon deunyddiau marchnata i'w gyfeiriad e-bost gwaith personol. O dan Reoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig, bydd rhaid i chi ddweud pwy ydych chi a rhoi eich manylion cyswllt er mwyn i'r unigolyn allu gwneud cais i roi'r gorau i dderbyn deunyddiau marchnata os yw am wneud hynny. Os ydych yn derbyn cais o'r fath, rhaid i chi gydymffurfio â'r cais.

## Beth arall y mae angen i mi ei ystyried?

**Cadw data personol**

Wrth ymgysylltu ag ymddiriedolaethau, efallai yr hoffech chi storio data personol gweithiwr neu ymddiriedolwr sy'n gyswllt ar gyfer amrywiaeth o ddibenion y tu hwnt i'r cais cychwynnol, gan gynnwys cysylltu â nhw ynghylch digwyddiadau codi arian yn y dyfodol.

Os hoffech chi wneud hynny, mae angen i chi sicrhau bod yr unigolyn yn gwybod eich bod yn cadw ei ddata personol a'r dibenion rydych yn cadw'r data hwn ar eu cyfer, gan geisio ei gydsyniad ar gyfer prosesu ei ddata neu ddibynnu ar fudd cyfreithlon eich sefydliad. Dylai hefyd gael cyfle i wrthwynebu prosesu'r data ar gyfer unrhyw un o'r dibenion rydych wedi'u nodi.

Os ydych yn defnyddio budd cyfreithlon, mae'n bwysig bod mor glir â phosibl yn eich datgeliad preifatrwydd cychwynnol i'r unigolyn ynghylch yr holl ddibenion rydych yn rhagweld y byddwch yn defnyddio'r data ar eu cyfer. Rhaid i ddata personol gael eu cadw dim ond cyhyd ag y bo angen i gyflawni'r diben y cafodd ei brosesu ar ei gyfer. Pan fydd y diben hwnnw wedi dod i ben, rhaid i chi naill ai ddileu data'r unigolyn neu fynd yn ôl i'r unigolyn i roi gwybod iddo fod eich diben prosesu wedi newid a sut.

**Gwnewch yn siŵr eich bod chi'n glir ynghylch y canlynol:**

- pa ddata personol rydych yn ei gadw
- ar ba sail gyfreithlon rydych yn ei gadw
- a yw'r diben rydych wedi bod yn ei brosesu ar ei gyfer yn dal i fod yn gymwys, ac os ydw
- sut y byddwch yn cadw'r data yn gywir ac yn gyfoes.

**Prosesu data 'categorïau arbennig'**

Bydd rhaid i unrhyw ddata personol ar gyfer unigolion a ddosberthir fel 'categori arbennig' gael cydsyniad penodol gan yr unigolyn hwnnw i'w brosesu (neu sail gyfreithlon arall os yw ar gael). Mae data categori arbennig yn cynnwys, ond nid yw wedi'i gyfyngu i, wybodaeth hiliol neu dras ethnig, credoau gwleidyddol a chrefyddol, yn ogystal ag unrhyw gyflwr corfforol neu iechyd meddwl.

**Defnyddio data sydd ar gael yn gyhoeddus**

Efallai yr hoffech chi brosesu data personol sydd ar gael yn gyhoeddus at ddibenion codi arian (er enghraifft, edrych ar wybodaeth sydd ar gael i'r cyhoedd am ymddiriedolwyr sefydliadau sy'n rhoi grantiau i gael gwybod rhagor am eu buddiannau a'r prosiectau/achosion y maent yn debygol o gyllido). Wrth wneud hyn, mae'n bwysig bod gwybodaeth yn cael ei rhoi ynghylch prosesu teg. Dylid ystyried hefyd i ba raddau y mae prosesu gwybodaeth sydd ar gael yn gyhoeddus o fewn disgwyliadau rhesymol rhywun - er enghraifft, y gwahaniaeth rhwng adolygu'r disgrifiad o weithiwr ar wefan cwmni a chyfrif Facebook personol rhywun.

Mae codwyr arian yn debygol o ddefnyddio budd cyfreithlon fel sail ar gyfer ymchwil gan ddefnyddio gwybodaeth sydd ar gael yn gyhoeddus, ond ni allwch gymryd yn ganiataol dim ond oherwydd ei fod ar gael yn gyhoeddus y gellir ei ddefnyddio'n ddiamod. Bydd rhaid i chi ystyried y cyd-destun a disgwyliadau rhesymol yr unigolyn gan sicrhau nad yw buddiannau a hawliau preifatrwydd yr unigolyn yn bwysicach na'ch budd cyfreithlon eich hun o brosesu'r wybodaeth hon. Mae disgwyliadau rhesymol yr unigolyn yn debygol o amrywio yn dibynnu ar y math o ddata sydd ar gael yn gyhoeddus a'r cyd-destun y cafodd y data ei gyhoeddi ar ei gyfer yn wreiddiol.

Ar adeg briodol yn gynnar yn y broses, bydd rhaid i chi roi gwybod i'r unigolyn hefyd bod ei wybodaeth wedi cael ei defnyddio yn y ffordd hon (er enghraifft, trwy roi eich polisi preifatrwydd iddo) a chynnig cyfle iddo wrthwynebu defnyddio ei ddata fel hyn. Gweler Cwestiwn 2 i gael rhagor o wybodaeth ar ddefnyddio budd cyfreithlon.

Os yw hawliau preifatrwydd yr unigolyn yn bwysicach na'r budd cyfreithlon o brosesu'r wybodaeth hon, bydd rhaid cael cydsyniad (neu sail gyfreithlon arall).

Y ffordd hawsaf i hysbysu pobl yw trwy ddarparu hysbysiad preifatrwydd eich sefydliad iddynt.

---

**Cyfeirio ac adnoddau:**

**ICO**

Canllaw i'r Rheoliad

https://ico.org.uk/for-organisations/guide-to-the-general-data-protection-regulation-gdpr/

Canllaw Marchnata Uniongyrchol:

https://ico.org.uk/media/for-organisations/documents/1555/direct-marketing-guidance.pdf

Asesiadau effaith diogelu data

https://ico.org.uk/for-organisations/guide-to-data-protection/guide-to-the-general-data-protection-regulation-gdpr/accountability-and-governance/data-protection-impact-assessments/

**Y Rheoleiddiwr Codi Arian**

Cod Ymarfer Codi Arian

https://www.fundraisingregulator.org.uk/code

**CIoF**

Y Rheoliad Diogelu Data Cyffredinol: Yr Hanfodion ar gyfer Sefydliadau Codi Arian
https://ciof.org.uk/events-and-training/resources/gdpr-the-essentials

**Cefnogwyd gan:**

CHARITY COMMISSION FOR ENGLAND AND WALES · The Charity Commission for Northern Ireland · Scottish Fundraising Standards Panel · NCVO · WCVA · NICVA